Diogelu data

# Canllaw ymarferol i ddiogelwch TG

## Delfrydol i fusnes bach



Dywed y Ddeddf Diogelu Data y dylid "dilyn mesurau technegol a sefydliadol priodol yn erbyn proses heb awdurdod neu anghyfreithiol o ddata personol yn erbyn colli damweiniol neu ddinistrio, neu ddifrodi, data personol". Gelwir hyn y seithfed egwyddor diogelu data ac fe'i hesbonnir yn fanylach ar ein gwefan, www.ico.org.uk.

Gall cadw eich systemau TG yn ddiogel fod yn dasg gymhleth ac mae'n galw am amser, adnoddau a gwybodaeth arbenigol. Os oes gennych ddata personol yn eich system TG, mae angen i chi gydnabod y gallai fod dan risg a dilyn mesurau technegol priodol i'w ddiogelu. Dylai'r mesurau a sefydlwch fod yn addas i anghenion eich busnes penodol. Nid oes rhaid iddynt o reidrwydd fod yn ddrud neu'n llafurus. Efallai y byddant hyd yn oed am ddim neu eisoes ar gael yn y systemau TG sydd gennych yn barod.

Rydym wedi cynhyrchu'r canllaw hwn i roi cyngor ymarferol i fusnesau bychain ym maes diogelwch TG.



## Beth yw'r fantais i chi?



Gallai mynd yn groes i ddeddfwriaeth diogelu data arwain at godi dirwy ar eich busnes – hyd at £500,000 mewn achosion difrifol. Gallai enw da eich busnes hefyd fod yn y fantol os yw diogelwch annigonol yn cyfrannu at achosion amlwg o golli neu dwyn data.

Fodd bynnag, mae yna fesurau y gallwch eu rhoi ar waith i atal toriadau diogelwch neu gyfyngu'r difrod os byddant yn digwydd.

### Y cam cyntaf: asesu'r risg i'ch busnes

Cyn y gallwch sefydlu pa lefel o ddiogelwch sy'n addas i'ch busnes, bydd angen i chi adolygu'r data personol a gedwir gennych ac asesu'r risgiau i'r data hwnnw. Dylech ystyried pob proses wrth i chi gasglu, storio, defnyddio a gwaredu ar ddata personol.

Ystyriwch pa mor werthfawr, sensitif neu gyfrinachol yw'r wybodaeth a pha ddifrod neu drallod a ellid ei achosi i unigolion pe byddai yna doriad diogelwch.

Gyda syniad clir o'r risgiau, gallwch ddechrau dewis y mesurau diogelwch sy'n briodol i'ch anghenion. Y cam nesaf yw dechrau eu rhoi ar waith.

### Dilynwch ymagwedd haenog i ddiogelwch

Nid oes un cynnyrch unigol a fydd yn rhoi gwarant 100% i chi o ddiogelwch ar gyfer eich busnes. Yr allwedd i ddiogelwch effeithiol yw dilyn ymagwedd haenog, gan gyfuno nifer o wahanol arfau a thechnegau. Pe byddai un haen yn methu, yna mae eraill ar waith i ddal y bygythiad.

# Rhestr Wirio: Defnyddiwch ymagwedd haenog i ddiogelwch

☐ **Diogelwch corfforol**

Mae'n bosib y byddai offer yn cynnwys data personol yn cael ei ddwyn mewn lladrad. Dylech sicrhau bod data personol ar eich systemau wedi ei ddiogelu yn erbyn y bygythiadau hyn. Dylai eich gweinyddwyr fod mewn ystafell ar wahân gyda diogelwch ychwanegol. Ni ddylid gadael dyfeisiadau wrth gefn yn ddioruchwyliaeth a dylid eu cloi ymaith pan nad ydynt mewn defnydd.

☐ **Meddalwedd gwrthfeirysau a gwrthfeddalwedd faleisus**

Dylai fod gennych gynnyrch gwrthfeirysau a gwrthfeddalwedd faleisus yn sganio eich rhwydwaith yn rheolaidd i atal neu ganfod bygythiadau. Byddwch hefyd angen sicrhau eu bod yn gyfredol.

☐ **Amddiffyniad rhag ymyrraeth**

Mae angen i chi allu atal toriadau rhag digwydd cyn iddynt dreiddio'n ddwfn i mewn i'ch rhwydwaith, er enghraifft, trwy ddefnyddio llen dân wedi ei ffurfweddu'n dda.

☐ **Rheoliadau mynediad**

Cyfyngwch fynediad at eich system i ddefnyddwyr a ffynonellau yr ydych yn ymddiried ynddynt. Rhaid i bob defnyddiwr gael ei enw defnyddiwr a chyfrinair ei hun.

Mae ymosodiad cyfrinair grym sylweddol yn ddull cyffredin o ymosodiad, o bosibl hyd yn oed gan ddefnyddwyr achlysurol yn ceisio cael mynediad at eich Wi-Fi felly mae angen i chi orfodi cyfrineiriau cryf, cyfyngu'r nifer o geisiadau aflwyddiannus i fewngofnodi a gorfodi newid cyfrineiriau yn rheolaidd.

Dylid canslo cyfrineiriau neu fynediad arall ar unwaith os bydd aelod o staff yn gadael y sefydliad neu'n absennol am gyfnodau hir.

☐ **Ymwybyddiaeth a hyfforddiant i gyflogeion**

Mae angen i gyflogeion ar bob lefel fod yn ymwybodol o beth yw eu rolau a chyfrifoldebau.

Hyfforddwch eich staff i adnabod bygythiadau megis negeseuon e-bost gwe-rwydo a meddalwedd maleisus arall.

☐ **Segmentiad**

Gallwch atal neu gyfyngu difrifoldeb toriadau data trwy rannu a chyfyngu mynediad rhwng cydrannau eich rhwydwaith. Er enghraifft, dylai eich gweinydd y we fod ar wahân i'ch prif weinydd ffeiliau. Golyga hyn os yw'ch gwefan dan fygythiad ni fyddai gan yr ymosodwr fynediad uniongyrchol at eich storfa data canolog.

☐ **Polisïau**

Bydd polisi yn eich galluogi i sicrhau eich bod yn delio â'r risgiau mewn modd cyson. Dylai polisïau sydd wedi eu hysgrifennu'n dda integreiddio'n dda â phrosesau busnes.

☐ **Caledu dyfais**

Dylid cael gwared ar unrhyw feddalwedd a gwasanaethau na ddefnyddir o'ch dyfeisiadau. Mae gan fersiynau hŷn o rai mathau cyffredin o feddalwedd hanes o fod yn agored i ymosodiadau. Os nad ydych yn ei ddefnyddio, yna mae'n llawer haws cael gwared arno na cheisio ei gadw yn gyfredol.

Sicrhewch eich bod wedi newid unrhyw gyfrineiriau diofyn a ddefnyddir gan y meddalwedd neu galedwedd – mae'r rhain yn gyfarwydd i ymosodwyr.





# Diogelwch eich data wrth deithio

**Beth yw'r broblem?**

Mae angen i chi sicrhau y gweithredir yr un lefel o ddiogelwch o ran data personol ar ddyfeisiadau a ddefnyddir tu allan i'r swyddfa. Mae nifer o doriadau data yn deillio o ddwyn neu golli dyfais (e.e. gliniadur, ffôn symudol neu yriant USB), ond dylech hefyd ystyried y diogelwch a ddarperir ar gyfer data y byddwch yn anfon trwy e-bost neu'r post. Gallwch gymryd camau i leihau effeithiau lladrad trwy sicrhau naill ai nad yw'r data personol ar y ddyfais yn y lle cyntaf neu ei fod wedi ei ddiogelu'n briodol fel na ellir cael mynediad ato.

**Beth allaf i wneud?**

- Mae amgryptiad yn fodd o sicrhau mai dim ond defnyddwyr ag awdurdod sy'n gallu cael mynediad i ddata. Fel arfer, mae angen cyfrinair i 'ddatgloi' y data. Mae rhagor o wybodaeth ar ein gwefan, www.ico.org.uk.
  - Golyga amgryptiad disg llawn fod yr holl ddata ar y cyfrifiadur wedi ei amgryptio.
  - Mae amgryptio ffeil yn golygu y gellir amgryptio ffeiliau unigol.
  - Dylai eich cyfrinair amgryptiad fod yn gymysgedd o lythrennau mawr a bach, rhifau a nodau arbennig (h.y. #, &, !) a dylai fod yn gyfrinachol.
  - Mae rhai meddalwedd yn cynnig amddiffyniad cyfrinair i atal pobl rhag gwneud newidiadau i'r data ond efallai na fydd hyn yn stopio lleidr rhag darllen y data. Sicrhewch eich bod yn gwybod yn union pa lefel o amddiffyniad ydych chi'n defnyddio ar gyfer eich data.
- Mae rhai dyfeisiadau symudol yn cefnogi cyfleuster analluogi neu lanhau o bell. Mae hyn yn eich galluogi i anfon signal i ddyfais a gollwyd neu sydd wedi ei dwyn i'w leoli ac, os oes angen, i ddileu'r holl ddata yn ddiogel.
  - Bydd angen cofrestru eich dyfeisiadau o flaen llaw gyda gwasanaeth fel hyn.
- Dim ond os oes wir ei angen y dylid trosglwyddo data personol i ddyfeisiadau symudol a dylid cael gwared arno unwaith na fydd ei angen.



# Eich cadw chi a'ch systemau yn gyfredol

**Beth yw'r broblem?**

Mae offer a meddalwedd cyfrifiadurol angen gwaith cynnal a chadw rheolaidd i'w gadw'n rhedeg yn esmwyth ac i drwsio unrhyw wendidau diogelwch. Mae meddalwedd diogelwch fel gwrthfeirysau a gwrthfeddalwedd faleisus angen ei ddiweddaru'n rheolaidd i barhau i ddarparu amddiffyniad digonol.

**Beth allaf i wneud?**

- Sicrhewch fod unrhyw feddalwedd diogelwch sydd gennych wedi ei droi ymlaen ac yn monitro'r ffeiliau fel y dylai.
- Cadwch eich meddalwedd yn gyfredol trwy wirio yn rheolaidd am ddiweddariadau a'u rhoi ar waith. Gellir gosod y rhan fwyaf o feddalwedd i ddiweddaru'n awtomatig.
- Os yw'ch system yn gymharol hen, dylech adolygu'r amddiffyniad sydd gennych i sicrhau ei fod yn dal yn ddigonol.
- Dylech hefyd gadw eich gwybodaeth o fygythiadau yn gyfredol trwy ddarllen bwletinau diogelwch neu gylchlythyrau gan sefydliadau perthnasol i'ch busnes.
- Dylech hefyd roi gwybod i'ch staff am fygythiadau posibl i'ch sefydliad. Gallai hyn gynnwys hysbysu cyflogeion o'r risgiau sy'n gysylltiedig â chyhoeddi gwybodaeth yn ymwneud â'ch gweithgareddau busnes ar rwydweithiau cymdeithasol neu sicrhau eu bod yn gwybod sut i adnabod negeseuon e-bost gwe-rwydo.

# Cadw llygad am broblemau

**Beth yw'r broblem?**

Gall troseddwyr seiber neu feddalwedd faleisus ymosod ar eich systemau heb i neb sylwi am amser hir. Dim ond pan fydd yn rhy hwyr fydd nifer o bobl yn canfod eu bod wedi eu hymosod er bod arwyddion rhybudd yno.



**Beth allaf i wneud?**

- Gwiriwch eich negeseuon meddalwedd diogelwch, logiau rheoli mynediad a systemau adrodd eraill sydd gennych yn rheolaidd.
- Sicrhewch y gallwch wirio pa feddalwedd neu wasanaethau sy'n rhedeg ar eich rhwydwaith. Sicrhewch y gallwch nodi a oes yn rhywbeth yno na ddylai fod.
- Dylech redeg sganiau gwendid a phrofion treiddiad rheolaidd i sganio'ch systemau ar gyfer gwendidau hysbys – sicrhewch eich bod yn delio ag unrhyw wendidau a nodwyd.



## A wyddoch chi beth ddylech fod yn wneud?

**Beth yw'r broblem?**

Nid oes gan rai sefydliadau lefelau digonol o amddiffyniad am nad ydynt yn defnyddio'r diogelwch sydd ganddynt eisoes yn gywir, ac nid yw'n bosibl gweld pan fydd problem pob tro. Mae angen i chi sicrhau bod eich cyflogeion i gyd yn ymwybodol o'u rolau a chyfrifoldebau a'u bod yn gwybod pan fydd angen gweithredu. Dylech hefyd ystyried pa weithredoedd ddylech eu rhoi ar waith os byddwch yn dioddef toriad data.

**Beth allaf i wneud?**

- Cymerwch amser i adolygu pa ddata personol sydd gennych ar hyn o bryd a'r dulliau amddiffyn sydd gennych ar waith.
- Sicrhewch eich bod yn cydymffurfio ag unrhyw ganllaw gan y diwydiant neu ofynion cyfreithiol.
- Cofnodwch y rheoliadau sydd gennych ar waith a nodi lle mae angen i chi wneud gwelliannau.
- Unwaith y bydd y gwelliannau wedi eu gweithredu, dylech barhau i fonitro'r rheoliadau a gwneud addasiadau ble fo angen.



- Ystyriwch y risgiau ar gyfer pob math o ddata personol sydd gennych a sut fyddech yn rheoli toriad data. Fel hyn gallwch leihau'r effaith os bydd y gwaethaf yn digwydd.
- Dylech hefyd gael polisi defnydd derbyniol a deunydd hyfforddi i staff fel eu bod yn gwybod beth yw eu cyfrifoldebau diogelu data.
- Gofynnwch i arbenigwr diogelwch adolygu eich systemau. Bydd hyn yn amlygu ble mae eich gwendidau diogelwch a sut i ddelio â nhw.
- Peidiwch ag anghofio i greu copi wrth gefn o'ch data. Dylid creu copïau wrth gefn yn rheolaidd, eu cadw'n ddiogel a'u dileu'n briodol pan nad oes eu hangen mwyach.

## Lleihau eich data

**Beth yw'r broblem?**

Dywed y Ddeddf Diogelu Data y dylai data personol fod yn gywir, yn gyfredol a'i gadw am ddim mwy nag sydd angen. Gydag amser efallai y byddwch wedi casglu symiau enfawr o ddata personol. Efallai y bydd rhywfaint o'r data hwn wedi dyddio ac yn anghywir neu ddim yn ddefnyddiol bellach.

**Beth allaf i wneud?**

- Penderfynwch a ydych yn dal angen y data. Os felly, a yw wedi ei storio yn y man cywir?
  - Os oes gennych ddata y mae angen i chi ei gadw at ddibenion archifo, ond nad ydych angen mynediad rheolaidd ato, dylid ei symud i leoliad mwy diogel. Bydd hyn yn helpu atal mynediad heb awdurdod.
- Os oes gennych ddata nad ydych ei angen bellach mewn gwirionedd, dylid ei ddileu. Dylai hyn fod yn unol â'ch polisïau dargadw a gwaredu ar ddata. Efallai y byddwch angen meddalwedd neu gymorth arbenigol i wneud hyn yn ddiogel.



## Sicrhewch fod eich contractwr TG yn gwneud beth y dylai fod yn wneud

**Beth yw'r broblem?**

Mae nifer o fusnesau bychain yn rhoi eu gofynion TG ar gontract allanol i drydydd parti. Dylech fod yn fodlon eu bod yn trin eich data gydag o leiaf yr un lefel o ddiogelwch ag y byddech chi.

**Beth allaf i wneud?**

- Gofynnwch am archwiliad diogelwch o'r systemau yn cynnwys eich data. Gallai hyn helpu nodi unrhyw wendidau er mwyn i chi fynd i'r afael â nhw.
- Adolygwch gopïau o asesiadau diogelwch eich darparwr TG.
- Os yn briodol, dylid ymweld â swyddfeydd eich darparwr TG i sicrhau eu bod fel y byddech yn disgwyl.
- Gwiriwch y contractau sydd gennych. Rhaid iddynt fod yn ysgrifenedig ac yn gofyn i'ch contractwr weithredu yn unol â'ch cyfarwyddiadau yn unig a chydymffurfio gyda gofynion penodol y Ddeddf Diogelu Data.
- Peidiwch ag esgeuluso gwaredu asedau – os byddwch yn defnyddio contractwr i ddileu data a gwaredu ar neu ailgylchu eich offer TG, sicrhewch eu bod yn gwneud hynny yn ddigonol. Gellir eich dal yn gyfrifol os bydd data personol a gasglwyd gennych yn cael ei echdynnu o'ch hen offer TG wrth ei ailwerthu.



## Ble gallaf gael rhagor o wybodaeth?

**Beth yw'r broblem?**

Fel y nodwyd yn yr ystod o bynciau a drafodwyd yn y canllaw hwn, gall gadw rhwydwaith TG yn ddiogel fod yn dasg gymhleth ac mae'n galw am amser, adnoddau a gwybodaeth arbenigol. Fodd bynnag, mae yna amrywiaeth o sefydliadau yn cynnig cyngor a chanllaw priodol i'ch busnes.

**Beth allaf i wneud?**

Mae'n anodd darparu ateb syml gan fod pob sefydliad yn prosesu data personol yn wahanol ac mae dan beryg o fygythiadau gwahanol. Fodd bynnag, mae yna nifer o sefydliadau sy'n darparu cyngor yn benodol ar gyfer busnesau bychain.

Dylech annog ymwybyddiaeth gyffredinol o ddiogelwch yn eich sefydliad. Mae diwylliant sy'n ymwybodol o ddiogelwch yn debygol o adnabod risgiau diogelwch. Mae'r ICO yn darparu ystod o adnoddau y gallwch eu harchebu o'r wefan, www.ico.org.uk

**Get Safe Online** (www.getsafeonline.org)

Menter ar y cyd rhwng y llywodraeth, gwasanaethau gorfodi'r gyfraith, busnesau blaenllaw a'r sector cyhoeddus i ddarparu defnyddwyr cyfrifiaduron a busnesau bychain â chyngor annibynnol a hwylus am ddim a fydd yn eu galluogi i ddefnyddio'r rhyngrwyd mewn modd hyderus a diogel.

**Business Link** (www.businesslink.gov.uk)

Business Link yw adnodd ar-lein y llywodraeth ar gyfer busnesau. Mae'r safle yn cynnwys gwybodaeth yn ymwneud â diogelwch TG ac e-fasnach ac mae wedi ei dargedu'n benodol at fusnesau.

Mae nifer o werthwyr diogelwch hefyd yn cynnig seminarau, gweminarau, cylchlythyrau, blogiau a chyngor ar eu gwefannau yn ogystal â chynnig archwiliadau diogelwch ffurfiol a gwasanaethau profi diogelwch.

**Action Fraud** (www.actionfraud.police.uk)

Os ydych chi wedi cael eich twyllo, gallwch roi gwybod i 'Action Fraud' - canolfan hysbysu twyll y Deyrnas Unedig. Gallwch hysbysu 'Action Fraud' am unrhyw dwyll os ydych chi yn y DU, os digwyddodd y twyll yn y DU neu os ydy'r twyll yn gysylltiedig â'r DU ac wedi digwydd ar-lein.

